*E.P.C. Welsh Drama Series, No. 16*

# YR HEN DEILIWR

*Darlun ar Fywyd Gwledig er ys tua Phedwar Ugain Mlynedd yn ol*

*Mewn Tair Act*

*Gan*
*J. LLOYD JONES, Barri.*



CARDIFF:
THE EDUCATIONAL PUBLISHING CO., LTD.

1920

## ACT I.

Festri Plwyf Llansilio.

## ACT II.

Yn yr Esgerwen. Yr Hen Deiliwr wrth ei alwedigaeth.

## ACT III.

Ysgol Gân, a chanu llawen yn yr Esgerwen.

## PRIF GYMERIADAU.

---

| | |
|---|---|
| Dafydd Dafis | Yr Hen Deiliwr. |
| Lloyd Williams | Scweier Plâs y Wern. |
| Parch. Sinett Jenkins | Ficer Llansilio. |
| Sioni'r Clochydd | Clochydd Llansilio. |
| Daniel Lewis | Mab Esgerwen — Hen Lanc. |
| Siams | Teiliwr gyda Dafydd Dafis. |
| Twm | Prentis gyda Dafydd Dafis. |
| Ifan y Gwahoddwr | Gwahoddwr Priodasau. |
| John Jones, Pantyrhebog | Aelodau o'r Festri. |
| Dafydd Ifans, Pantmoch | Aelodau o'r Festri. |
| Siaci'r Felin | Aelodau o'r Festri. |
| Tomos | Cotchman y Scweier. |
| Sian Lewis | Gwraig yr Esgerwen. |
| Mari Jones | Gwraig Pantyrhebog. |
| Sarah | Morwyn yr Esgerwen. |
| Nansi Jac Potcher | Gwraig Jac Potcher. |
| Plant Nansi. | |

Yn yr Ysgol Gân o hanner dwsin i ddwsin o ferched yn ychwanegol, i wneud y côr i fyny.

## CYFARWYDDIADAU ACT I.

---

LLEOLIAD :—*Ystafell Festri Plwyf Llansilio. Ar esgynlawr dynodir hen ystafell blaen, tebyg i hen ysgoldy â gwelydd gwyngalchog, a ffenestri eglwys. Bwrdd hir plaen, a chadeiriau, ac unrhyw angenrheidiau i ddynodi y fath ystafell.* Y CLOCHYDD *yn nillad treuliedig y* FFEIRAD, *a'r lleill yng ngwisg ffermwyr cyfrifol (brethyn llwyd a britis penlin).*

# YR HEN DEILIWR

## ACT I.

[GOLYGFA—*Festri Plwyf Llansilio. Sŵn y* CLOCHYDD *yn paratoi yr ystafell erbyn y Festri, ac yn siarad yn synfyfyriol.*]

SIONI : Brau ac ansicr ydyw yr hen fywyd 'ma, ac i fynwent Llansilio y daw y trigolion o un i un. Y mae gwaith clochydd yn eitha diddorol, ac mi ga i dipyn o hyfrydwch wrth wylio'r hen elyn yn agoshau. Rwy'n gwybod yn eitha da pwy fydd y nesa' i fynd. Yr hen Wil y Carter. 'Roedd golwg angeu yn 'i wyneb e' dydd Sul, a mi dowles i olwg drosto er mwyn bod yn barod. Mi alla neud hyn o ymffrost 'mod i yn gwbod maint y bedd fydd yn eisie arnyn' nhw i gyd. Un olwg i Sioni, 'does eisie na phlan na mesur wedyn. Mi greda i mai'r lle gore i gladdu yr hen Wil fydd o dan yr hen goeden dderw wrth ochor Parc y Ficer. Mi leicie'r hen " foy " orwedd fan hynny, mi wn.

(Y FFEIRAD *yn dod i mewn â llyfr mawr dan ei gesail.*)

Y FFEIRAD : Heb gynnu'r canwylle wyt ti, Sioni ? Mae'n well i ti neud brys, mae'n amser dachre'r festri. Pendrymu fel arfer, â'th feddwl yn yr hen fynwent. D'wed am faint ma'r angladd 'fori, a chofia 'ngalw i mewn amser.

SIONI : Am ddeg, syr ; mi ofala eich galw mewn amser. Yr ydych chi a finne wedi rhoi cannoedd dan y dywarchen lâs erbyn hyn, syr, a dyna'r hen Fari Gingerbread wedi mynd ar ei thaith ola' o'r diwedd, er mor wddyn oedd yr hen greadur. 'Does ganddi na châr na chyfaill i wylo deigryn ar ei hol. Druan o'r hen Fari.

Y FFEIRAD : Yr wyf wedi clywed digon o dy fyfyrdodau di, Sioni, ar einioes ac angeu erbyn hyn. Yr un hen stori ar dy dafod, a'r un hen wep ar dy wyneb. Cer, nawr, adre at Pegi, mae'r Festri yn dechreu crynhoi.

(*Aelodau o'r Festri yn dod i mewn, ac yn eistedd, y* SCWEIER *yn ola, a'r ffermwyr yn codi i ddangos parch iddo.* DAFI'R TEILIWR *yn parhau i eistedd.*)

Y FFEIRAD : Mi wela fod y Festri yn llawn ag eithrio Siaci'r Felin. Mi ddaw Siaci heb fod yn hir. Mae hi dipyn yn dywyll i drafaelu drwy Allt y Cadno. Mae'n well i fi ddarllen cofnodion y Festri ddiwedda, ac yna mi awn ymlaen â'r fusnes. (*Yn darllen o lyfr y Festri.*)

"Cofnodion Festri Plwyf Llansilio, a gadwyd nos Lun, Rhagfyr yr ail, 1842. Yn bresennol: Y Parch. Sinett Jenkins yn y gadair, Mr. Lloyd Williams, John Jones, Dafydd Ifans, Daniel Lewis, Siaci'r Felin, a Dafi'r Teiliwr. Yn gyntaf pasiwyd fod y biliau canlynol i'w talu :—

| | | s. | d. |
|---|---|---|---|
| I John Richards y Preintar am Gomon Prayer - - - | | 2 | 0 |
| I Pegi'r Clochydd am olchi'r wisg wen - - - | | 1 | 0 |
| I Sion y Gô am allwedd newydd - | | 0 | 6 |
| I Twm Sâr am goffin Sian Pwllybroga - - - - | | 5 | 0 |
| I William 'Ralltfowr am gadw Jane Owen am gwarter, ac am bâr o glocs i Jane - - | | 15 | 6 |
| I Wil y Crydd fel help at gwiro'i ddillad - - - - | | 0 | 3 |
| I Sian Pantywhiaid am olchi crys Jac yr Hatter - - - | | 0 | 4 |
| I wraig Twm bach tra'r oedd Twm yn y jâl - - - | | 2 | 6 |
| I Leisa Dafi'r Wper am dorri cerrig | | 0 | 8½ |
| I'r Cwnstebliaid am dendo'r Sessiwn | | 7 | 6 |
| Y Cyfanswm yn - - | £1 | 15 | 3½ |

JOHN JONES: Dyna fel ma'r arian yn mynd, coste, coste, o hyd.

Y SCWEIER: LLai o sŵn, John; ma tafod ti rhy hir. Cerwch mlân, Jenkins.

Y FFEIRAD: "Penderfynwyd rhoi to newydd ar yr Eglwys o lechau Carnarfon, ac fod Mr. Jenkins i gâl yr hen rai am y drwbwl o'u cywain i ffwrdd.

"Penderfynwyd nad yw y plwy' yn mynd i gadw Beca'r Wyau yn rhagor, am ei bod wedi ennill 'i phlwy' yn Llanaber.

"Penderfynwyd fod John Jones a Dafydd Ifans i surveyo y ffordd o Maeslan i'r Felinganol, a'u bod i ddod â'r cownt i'r Festri heno.

"Penderfynwyd fod Nansi Jac Potcher i ddod o flaen y Festri heno."

Y SCWEIER: Very good, very good. A fi'n cynnyg 'nawr, Mr. Chairman, fod ni'n câl report John a Dafi am y ffordd. Well i ti, Dafi, siarad, mi fydd John ding-dong, ding-dong drw'r nos yn gweyd 'i stori, a ma ladi yn disgwyl fi catre i cinio.

Y FFEIRAD: Eitha reit, Mr. Williams. Dewch Dafydd Ifans â'ch report am y ffordd.

DAFYDD IFANS: Wel, gyfeillion, i fod yn fyr, rhaid gweyd y gwir, mae'r ffordd o Maeslan i'r Felinganol mewn cyflwr ofnadw. Mi gym'rith tuag ugen llwyth o gerrig i lanw'r twlle ar ol y llif diwedda, heblaw pethau er'ill. Mae John a finne wedi cytuno mai y peth gore i neud ydyw gofyn i ffermwyr y

plwy am roi talcweth neu ddou i gywain cerrig yn ystod y rhew, a gadael i'r mynwod 'ma sy' ag eisie gwaith i dorri'r cerrig, ac i dalu Twm Crwca whech cheiniog y dydd am edrych ar 'u hole nhw, ac wrth gwrs i neud ei shâr o'r gwaith. A'r ffermwyr na allant roi talcweth, rhaid codi tôll arnyn nhw yn ol 'i hamgylchiadau : cwded o flawd, neu sached o dato, neu fasned o fenyn, a dyna gyflog y mynwod i chi. Ma John a finne o'r farn unfrydol mai dyna'r ffordd rata, a dyna'r prif beth wedi'r cwbwl.

Y SCWEIER : Very good, Dafydd, a chi'n gweyd y gwir bob gair. 'Rown i ar cefen y cel glâs mas yn hela, ac wrth croesi yr hen ffordd y jafol 'na mi a'th troed y cel bach i hen twll, a finne tros i ben e' i'r mwt, nes o'dd cot fi'n plastar, ac wedi spwylo altogether.

(SIACI'R FELIN *yn rhuthro i mewn, mor wyn a'r galchen ac yn crynu.*) Helo, Siaci Felin, be sy arnat ti, gwêd ?

SIACI'R FELIN : O, mishtir bach, rwy' wedi gweld pethe rhyfedd heno. Pan o'wn i'n dod fyny drwy Allt y Cadno 'roedd mor dywyll a'r fagddu, ac ofan yn y nghalon i y cwrddwn â'r Ladi Wen, neu'r Crach y Rhibyn fu ar ol Twm Sâr pan oedd yn dod nol o garu. Ar ac unwaith dyma fi'n clywed sŵn screchain, rhyw leisiau oerion, yn ddigon i hala iasau drwy gorff dyn, a dyma fi'n dechre' gwanddi

hi fel milgi, ond dilyn oedd y sŵn, ac yn dod yn nês o hyd, ac, o'r arswyd fawr, dyma rwbeth wrth y nhraed i o'r diwedd, a dyma finne yn dechre iwso'r bastwn. Ond er fy nychryn 'doedd yna ddim sylwedd i ddala ergyd o dan y bastwn. Ac mi nabyddes y fileiniaid. Haid o gŵn bendith y mamau ar eu ffordd i rwle. Ta Sioni'r Clochydd 'ma mi alle Sioni ddweyd i ble oedden nhw yn mynd, a phwy sydd i fadel nesa. Ond mae un cysur gen i, yr oeddynt yr ochor 'ma i'r afon. Alle nhw ddim bod yn mynd i'r Felin, waeth chroesa nhw ddim dŵr, fel y gwyddoch.

Y SCWEIER : A fi'n synnu atat ti, Siaci, yn dod 'ma i weyd hen stori baganaidd fel 'na. Pam na chi, Jenkins, Ffeirad, peidio pregethu yn erbyn hen trash fel 'na ? Cŵn bendith y mamau, wir, digon tebyg mai haid o llygod ffrenig welest ti, ar 'i ffordd i whilio ydlan newy'. Os o'nhw'n mynd i'r Plâs, mi ro'i y cipar, a'r fferets, a'r tarriers ar 'u hol nhw, a mi 'na i *short work* o'r scamps.

Y FFEIRAD : You must understand, Mr. Williams, that these country people live very close to nature and its mysteries, which are closely allied to the supernatural. Remember the words of our famous English poet :

"There are more things in heaven and earth,
Horatio,
Than are dreamt of in your philosophy."

Y SCWEIER: Jolly rot, I say. You are paid to knock this nonsense out of them, and see that you do it.

Y FFEIRAD: Rhaid mynd ymlaen â'r fusnes ar ol y digression yna. Rwy'n credu fod Nansi Jac Potcher wrth y drws; mae'n well ei chael i mewn yn awr. Nansi, dere i mewn. (NANSI *a'r plant yn dod i mewn ac yn rhoi cwtch i'r* SCWEIER *a'r* FFEIRAD.) Wel, Nansi, dyma ni wedi dy alw di o flaen y Festri, er mwyn setlo y peth gore i neud â thi a'r plant tra bo Jac yn jâl, ac er mwyn i'r Festri i gael gwybod dy amgylchiadau, dwed faint o blant sydd gyda thi.

NANSI: O, syr, mae gyda fi lond y tŷ o blant. Dyma John Thomas Henry, mae e'n naw; dyma Evan Jenkin Thomas, mae e'n wyth; a Mary Jane, yn saith; a Sarah Ellen, yn whech; a dyma'r un bach 'ma, Lloyd Williams—(*yn troi at y* SCWEIER *gan wenu a rhoi cwtch*)—mae e' wedi câl ych enw chi, syr, a dyma'r babi yn y nghôl i, mae e'n wyth mis.

Y FFEIRAD: Dyna hi, llon'd tŷ o blant, a'r tad yn y jâl am botchan.

NANSI: 'Dyw Jac ddim yn botcher, syr, nag yw wirione fach annwl. Yr hen gymdogion 'ma sy wedi gweyd celwy. Ma' pawb lawr ar bobol dlawd, a ma' nhw lawr ar Jac a finne am yn bod ni'n dlawd. O, Jac bach, dyna ti yn yr hen jâl heb neud un drwg, a finne a'r plant bach yn starvo. Beth ddaw o hono ni? (*Yn crio.*)

Y FFEIRAD: 'Nawr, Nansi, rhaid i ti fod yn dawel, ac edrych ar bethau fel y maent. Y mae Jac wedi torri'r gyfreth drwy botchan, ac y mae'r gyfreth wedi cymeryd gafael arno a'i roi yn y jâl.

NANSI: Ond 'dyw Jac ddim wedi bod yn potchan eriod, nag yw, wirione i.

Y SCWEIER: O'dd Jac ddim yn potcher, Nansi, a'r bobol yn gweyd celwy ie. Wen i wedi specto 'rhen Jac os llawer dy' a fi a'r cipar yn 'i watcho fe, y scamp, a d'odd dim ishe gwell evidens na ges i. A fi yn paso tŷ ti, Nansi, un diwarnod, a 'ma fi yn dachre smelo, smelo. Ma cawl gweningen yn tŷ Nansi, medde fi.

NANSI: Cawl gweningen, syr, phrofes i ddim cawl gweningen yn 'y mywyd. D'odd dim bwyd yn y tŷ, a mi gês asgwrn gyda Roli'r bwtchwr, i neud cawl i'r plant, a mi roes pun bach o deim a phersli o'r ardd yndo fe i neud blâs arno, a dyna beth wech chi'n smelo, syr. Ie, wirione fach annwl.

Y SCWEIER: Paid ti bod mor smart, Nansi. Ro'dd Carlo bach gyda fi, a ma' Carlo bach yn dachre smelo, a 'ma fe yn mynd miwn i gardd ti, Nansi, a 'ma fe'n dod 'nol â asgwrn gweningen yn 'i ben e'. A ma fe'n sefyll o mlan i ac yn edrych arna i, ac fel yn gweyd, Mistir, ma' fi wedi dala Jac Potcher o'r diwedd. Ie, Nansi, hen dyn drwg yw Jac, a hen potcher mowr hefyd, a fi'n falch fod e' yn y jâl.

NANSI : O, syr, peidiwch bod mor galon galed ; ma'r plant a finne heb fwyd yn y tŷ, ac heb dân ar y tywydd oer 'ma. O beth ddaw o hono ni ? (*Yn crio.*)

DAFI'R TEILIWR : Na chei di, Nansi, na'r plant ddim starvo tra bo Dafi'r Teiliwr yn gallu iwso nodwydd. Ar dy ffordd adre galw yn ein tŷ ni, a gwêd wrth Marged am roi cwded o flawd i ti, a phishyn o ham y mochyn coch.

NANSI : Diolch yn fowr, Dafi ; diolch yn fowr. (*Yn mynd allan.*)

DAFI'R TEILIWR : Mae 'ngwâd i'n berwi wrth ych clwed chi, Mr. Williams, yn siarad fel 'na. Mi allem feddwl fod lladd gwningen yn fwy o bechod na lladd dyn neu blentyn. Mae'r ffermwyrs 'ma ag ofan siarad o'ch blaen chi. Mi wyddan mai notis ga nhw, ond diolch i'r nefoedd, 'rwyf i yn byw ar dir fy hunan, a 'does ofan na sgweier nac arglwydd arna i. Odi chi'n meddwl fod y Bod mowr wedi trefnu yr hen fyd 'ma i'r cyfoethog yn unig ? Na, na, mi wela i bethe gwell yn dod ; fe fydd y gweithiwr a'r tlawd, fel y gwna addysg ledaenu, yn dechreu gweld mai caethion ydynt, yn rhwym, gorff ac enaid, dan law dynion fel chi, a Duw'ch helpo chi a'ch sort y dyddiau hynny. Mi ellwch ddychrynu Nansi Jac Potcher a ffermwyrs Llansilio, ond mae Dafi'r teiliwr yn golygu bod yn ddyn rhydd, ac yn golygu pregethu rhyddid hefyd.

Y SGWEIER : Dyma hi o'r diwedd. A fi a nhad a nhacu wedi tendo Festri Llansilio am ugeine o flynydde, a dyma fi, Scweier y plwy, yn gorffod grondo ar insults fel hyn 'da hen teilwr. Dyma be sy'n bod, Jenkins, Ffeirad, o câl hen deilwr i ddod i cymysgu â ffarmwyrs respectabl yn y Festri. A fi dim yn aros rhagor, a fi'n mynd catre at y ladi, a cofia di, Dafi teilwr, cei di dim gwinio stitch mwy i'r Plâs, a ma ishe dillad newy' ar y cotchman a'r bwtler 'nawr. A fi'n mynd.

Y FFEIRAD : Dear me, Mr. Williams, rhaid i chi basio heibio i Dafi. Mae e'n darllen yr hen bapyre 'ma am y Siartiaid, ac yn drysu ei ben gyda'r athrawiaethau newy' 'ma. Come, come, Mr. Williams, it is beneath your dignity to take notice of such words, especially coming from an ordinary tailor. Remember your high descent, and the noble traditions of your family. The patrician blood of the Lloyd Williams family is surely proof against these things. Come, Mr. Williams, sit down.

Y SCWEIER : Na, na, 'ma fi'n mynd. (*Yn gadael yr ystafell.*)

Y FFEIRAD : 'Rwyt ti, Dafi, wedi rhoi dy droed yndi o'r diwedd. Beth na i os na ddaw y Scweier i'r Eglwys, a beth ddaw o'r casgliad amser y Nadolig a'r Pasg ? Mi wela i amser gofidus o mlaen i, i dreio gneud heddwch rhyngot ti, Dafi, a'r Scweier a'r ladi. Ond ar ol y gofid a'r trwbwl

i gyd rhaid mynd ymlaen â'r fusnes. Beth i ni'n mynd i neud â Nansi a'r plant ?

DAFYDD IFANS : Wel, gyfeillion, mi greda i mai y peth gore i neud gyda Nansi a'r plant ydi hyn. Ma' un yn whech, un yn saith, un yn wyth, ac un yn naw, a ma' ganddi ddou un bach wedyn. Rwy' wedi siarad â'r ffermwyrs 'ma, ac yr ydym yn foddlon cymryd y pedwar hena. Un i Bantmoch, un i Bensingrug, un i Blaencaron, ac un i'r Esgerwen. Mi rown i fwyd iddyn nhw, ac ambell i hen bilyn fel bo ishe. Mi fyddan o ryw dipyn bach o help i hela ofan ar y brain, i mofyn y gwartheg, i fugeilio defaid, neu i dwtian gyda'r mynwod. Mi all Nansi dorri cerrig, mae hi'n fenyw gref, a naiff tipyn o waith caled ddim drwg iddi. Mi shifftith â'r ddou leia wedyn gyda thipyn o help cymdogion.

(*Sŵn mawr wrth y drws, a'r* SCWEIER *yn rhuthro i mewn yn wyllt, a* TOMOS Y COTCHMAN *yn ei ddilyn.*)

Y SCWEIER : Dyma hi o'r diwedd. Mae'r byd ar ben ; mae'r byd ar ben ! Twm Cotchman, dere mlaen, tyn dy hat lawr, a gwêd wrth y Festri be' sy wedi hapno mewn plwy respectabl fel Llansilio. Tyn dy hat lawr a paid sefyll fel post fan 'na. Gwêd dy stori.

TOMOS Y COTCHMAN : Ma'r si ar lêd, syr, fod Beca a'i merched ar garlam wyllt drwy y gymdogaeth.

DAFI'R TEILIWR : Hwre, bendigedig!

Y SCWEIER : Dyna result dy hen tafod ti, Dafi teilwr, a fi'n gweyd yn blaen os clywa i fod un o tenants y Plâs yn y busnes hyn, "Notis to quit" fydd hi at once. Cer ymlaen â dy stori, Twm, yn lle sefyll fel mwlsin fan 'na.

TOMOS Y COTCHMAN : 'Rodd y cipar a finne yn câl bob o beint yn Tafarn Spite heno, pan ddaeth gwas Hafod Isa miwn gan waeddi yn wyllt tros y lle fod Beca a'i merched ar gefen ceffyle ar garlam wyllt drwy y lle, eu bod nhw wedi torri gât New Inn, ac eu bod ar eu ffordd i dorri gât Drefach ; eu bod wedi gyrru i dŷ Salmon y Cybydd a'i dynnu o'i wely, a bwgwth llosgi ei helem wenith os na addewai roi help i bobol dlawd y plwy. Eu bod wedi cario plentyn Sian Pantfoel i dŷ Twm Sâr, a bwgwth towlu Twm i Bwll y Dibyn yn afon Teifi, os na wnai addaw priodi Sian. Yr oedd y ddau frawd gan fawr eu dychryn yn barod i addaw unrhyw beth. Yna fe aethant——(TOMOS Y COTCHMAN *am fynd ymlaen â'i stori, a'r* SCWEIER *am siarad.*)

Y SCWEIER : Dyna ddigon, dyna ddigon, mae'r byd ar ben. Mi fyddan yn dod i'r Plas nesa a hala ofn ar ladi, a llosgi y tai, a lladd y pheasants a'r gweningod, ond mi hala i yn straight at y Government i gal y soldiers lawr, a mi nawn cwnstebli newy.' A cofia di, Dafi teilwr, os clwa i dy fod ti yn torri y cyfreth mi cei di summons yn y fan. Mi dy ddysga i di i weyd hwre am fod Beca a'r set 'na yn

gneud drwg. Ac os cei di dau neu dri diwarnod yn y stocs, falle na fydd dy hen dafod ti mor hir. Dere, Twm, rhaid i fi alw y justices at 'i gily' i neud cwnstebli. (*Y* SCWEIER *yn llawn sŵn yn mynd allan, a'r* COTCHMAN *ar ei ol.*)

Y FFEIRAD: Wel, gyfeillion, Festri ryfedd gawsom ni heno. Gobeithio y gwnewch i gyd dreio cadw heddwch yn y plwy, a mi ddylet ti, Dafi, i gofio fod gwarogaeth i'w dalu i waedoliaeth a chyfoeth. Y mae graddau mewn cymdeithas i fod ac wedi bod erioed. "Y gweision, ufuddhewch i'ch meistriaid," medd yr Hen Air, a rheol dda i'w chadw yw hi hefyd. Rhaid cadw pobol dlawd yn eu lle, neu mi â'r byd yn bendramwnwgl. Gobeithio erbyn y Festri nesa y bydd pethau wedi tawelu, ac y bydd heddwch yn teyrnasu fel yr afon, ac y cawn ninnau gwrdd gyda'n gilydd fel cyfeillion.

(*Y Festri yn codi a'r llen yn disgyn.*)

## CYFARWYDDIADAU ACT II.

---

*Ar yr esgynlawr dynodir cegin hen ffermdy, a hen ddodrefn wedi eu taclu yn gymwys. Ar un ochr y mae y teilwriaid a'u taclau yn gweithio ar blatform neu fwrdd isel. Wrth y bwrdd sgwâr y mae* DAFYDD *a'i daclau yn torri dillad. Pan godir y llen, bydd pawb wrth eu galwedigaeth, fel yr awgrymir.*

DAFYDD FEL DOCTOR.—*Caria hen lyfr yn ei logell, a phriodol fydd ysgrifennu y cynghorion a'u nodi yn y llyfr fel y gellir troi iddynt heb drafferth. Nid gwaith dychymyg yr awdur yw y cynghorion hyn, ond y maent wedi eu copio yn gywir o hen lyfr a argraffwyd ym Merthyr Tydfil,* 1824.

## ACT II.

[GOLYGFA—*Ffermdy Esgerwen.* DAFYDD DAFIS, *ei weithiwr a'i brentis yn dilyn eu galwedigaeth.* SIAN LEWIS, *gwraig y tŷ, yn gwau hosan wrth y tân, a* SARA'R *forwyn yn twtian.* SIAN *yn cydio mewn cadair ac yn dod ymlaen i eistedd wrth ochr bwrdd* DAFI'R TEILIWR.]

SIAN : Wel, Dafi, mae gen i funud i spario 'nawr, os aiff yr hen groten bwdwr 'ma ymlân â'i gwaith. Wyddoch chi, mi leicwn gâl ych barn chi am fagu moch. Mae sôn am ych bacwn chi drwy'r holl wlad.

DAFYDD : O's, Sian, mae gen i ideas am fagu moch. Os am facwn blasus, mae rhaid gofalu am fwyd y moch. Dyna secret Marged a finne, ac yr ydym ni wedi 'studio y mater am flynyddoedd, ac y mae llawer cenhedlaeth o foch wedi bod drwy y prawf erbyn hyn. Mi ddarllenes yn " Seren Gomer " yn ddiweddar rhyw hanes rhyfedd am foch China. Mae'n debyg eu bod yn gadael y moch i redeg fel y mynnont drwy yr ystrydoedd, ac eu bod yn pigo i fyny —fel y gwna moch—bob hen sothach, a phob hen gelain. Ar ol bwyd fel yna mi allwch farnu nad oes gyda fi lawer o ffydd ym macwn China. (SARA,

*wedi gadael dau fwced i lawr ac yn gwrandaw yn astud.)*

SARA: Odi hyna yn wir, Dafi? Falle'u bod nhw yn trin y tê yr un peth a'r moch. 'Drychwch ar Mistress, mae hi wedi dwlu'n deg ar y tê 'ma o China. Ach y fi! weda i tabeth.

SIAN: Pwy ofynodd i ti saco dy big miwn? Cer di â'r llath 'na i'r lloi, a threia ddibennu dy waith cyn nos, a dysga ddala dy dafod. Falle wir, Dafi.

DAFYDD: Mi ddyle pob mochyn bach i gâl digon o lath nes iddo ddod yn slipyn. Yna digon o dato a llâth a blawd cyrch. Llai o hen olchan a slwtch fel 'na, a mwy o fwyd a thipyn o rinwedd ynddo, ac yna fe gewch gig moch gwerth i alw cig arno. Haen o gig coch a haen o gig gwyn bob yn ail, ac o flas hyfryd.

TWM, Y PRENTIS (*yn canu ar y dôn "Lili Lon"*):

Fe drigodd mochyn teiliwr tew,
Dim ond pen a chrug o flew,
Fe drigodd mochyn teilwr tene,
Dim ond pen a chrug o ddane.

DAFYDD: Twm, cer ymlaen â dy waith. Weles i ddim crwt mor ddiwerth, a thafod mor hir, a choese mor stiff, dim ond wrth y ford y mae e' ar ddihun.

SIAN: Ma' lot o hen ffwdan gyda'r hen foch. Wedi i chi roi pryd da iddyn' nhw, ma' nhw ar ych

ol chi wedyn yn union fel picwns yn gwichal ac yn rhwchian dros y lle.

DAFYDD: Tase chi'r mynwod 'ma yn gadel yr hen stond olchan 'ma yn llonydd, ac yn rhoi bwyd sylweddol i'r mochyn, mi ddysgech yn gloi ei fod yn real wrbonheddig. (*Cnoc wrth y drws.*)

SIAN (*yn mynd at y drws*): Dowch miwn, dowch miwn. (MARI JONES, *Pantyrhebog, yn dod i mewn.*) O, chi sy 'na, Mari? Dowch ymlân. Shwd ma' nhw yn Pantyrhebog? Isteddwch lawr.

MARI: 'Stafi ddim llawer o amser i aros. Wedi clwed o'wn i fod Dafi'r Teiliwr 'ma yn gweitho, ac am fod John y gŵr dipyn yn ganolig â Benni'r, ail grwt 'co, a'i wâd e'n torri o'i drwyn o hyd, mi ddoes drwa i gâl gweld a gawn i gyngor bach 'da Dafi.

SIAN: Allech chi ddim dod at ddyn callach, Mari fach. Wn i ddim shwd mae e'n galler gwbod popeth fel hyn. Ta chi yn 'i glwed e'n sharad am dendo moch just 'nawr, mi allech feddwl na nath e' ddim ond tendo moch yn 'i fowyd. Dowch ymlân ato. Dafi, ma Mari wedi galw i gâl gair gyda chi.

DAFYDD: Wel, Mari, shwd i chi heddy? Be' sy'n ych blino chi?

MARI: Wel, Dafi bach, ma'n ddrwg gen i weyd fod Benni'r ail grwt 'co â'i wâd e'n torri o'i drwyn o hyd. 'Rwy wedi treio popeth—neud iddo gnoi dail llydan y ffordd, rhoi allwedd ar 'i gefen e', ond

i ddim pwrpas ; a dyma fi wedi dod atoch chi, Dafi bach, i ofyn a oes gennych gyngor bach.

DAFYDD : Gwaed yn rhedeg o'i ffroenau, aie, Mari ?—Afiechyd digon cyffredin. Beth ta ni'n edrych beth ma'r awdurdod yn weyd ? Arhoswch funud. (*Yn tynnu llyfr o'i logell, ac yn chwilio.*) Dyma fe, Mari :—

"*Cyngor rhag gwaedu o'r trwyn.—Ysgrifenna â'th waed dy hyn ar dy dalcen y geiriau hun, 'consummatum est,' a'r gwaedu a baid.*"

Beth am hwnna, Mari ?

MARI : Ma'r cyngor yn eitha reit, a ma'r crwt bach yn colli digon o wâd i'w gario allan, ond alla i yn y myw i i gofio 'rhen eirie Sisneg 'na,—'rwy'n gwbod "*is*" a "*no,*" a dim rhagor, a tawn i yn i cofio nhw, all John na finne ddim scrifennu gair, Dafi bach. Chredwch chi ddim shwd ffwdan ma'r Ffeirad yn gâl gyda John yn y Festri pan fydd am iddo seino rhyw bapur. Ma'r Ffeirad yn scrifennu rhwbeth fel hyn : John Jones his mark, ac wedyn yn cydio yn llaw John, a John â'i dafod mas yn tynnu llun croes, a ta chi yn 'i goroni e', alle fe neud dim rhagor. Falle fod 'na gyngor bach arall, Dafi—rhwbeth mwy rhwydd.

DAFYDD : O's, ma' 'na gyngor arall, ac wedi gwella llawer un hefyd. Mari, grondwch 'nawr :—

"*Os bydd dy ffroen ddehau yn gwaedu, clyma fys bach dy law ddehau â charrau ledr, ac os y ffroen*

*chwith, clyma fys bach y llaw chwith yr un modd, a'r gwaedu a beidia."*

MARI : Mi gofia i hwnna'n 'ol reit, a chan fod y llyfyr yn ych llaw chi, falle y byddwch mor garedig a rhoi cyngor bach i fi i wella John y gŵr. 'Co lle mae e' yn lingran, lingran yn y gegin, ar ffordd bob un, dim stymog at fwyd, dim hwyl at waith, dim ond grwmblan a boddran o fore hyd nos bob dydd fel 'i gily.' 'Dyw e' werth dim fel y mae e', 'ddoch.

DAFYDD : Yr ydych wedi gweyd digon os meityn, Mari, 'rwy' wedi nabod y dolur. Yr hen, hen glefyd, Mari, y malancolia, a hen ddolur câs yw e' hefyd ; a'n ffordd i o ddoctoria yw hon. Cadw'n llygad ar y perigl sy o flân dyn, a rhoi moddion cryf er osgoi y perigl hwnnw. Dyna John 'nawr, yn y malancolia, am ei fod wedi byta bwyd rhy drwm, cig moch rhy frâs ; yr afu yn anhwylus, a rhedwelyau y bustl wedi eu gorlwytho, mewn perigl o gael y clefyd melyn. Os bydd dyn yn y malancolia, moddion rhag y clefyd melyn ; os poen yn y gwddwg, moddion dolur y gwddwg ; os poen yn yr ystumog, moddion rhag y colig neu y goluddwst.

TWM Y PRENTIS : Ac os bydd corn ar fys dy droed, moddion rhag cael dau gorn ar y pen, fel yr hen "foy."

DAFYDD : Dal di dy dafod, y labwst croendew. Dyma fel mae plant Llansilio yn cael eu dwyn fyny

’nawr, mor wahanol i’r hen amser, Mari. Ond i barhau, mae John ar y ffordd i gâl y clefyd melyn. Dewch i gâl gweld beth weda’r llyfyr ar y mater.

“ *I Wella’r Clefyd Melyn.—Cais chwe chant o’r pryfaid a elwir Moch y Coed neu Dyrchod Llwyd. Ysiga’r pryfed yn dda, a rho hwy yn wlych dros y nos mewn dau gwart o gwrw da. Yr ail ddydd gloewa’r ddiod a chymer hanner peint o honi yn y bore cyn bwyta, a’r nos wrth fynd i’r gwely. Byddai yn dda i ddala’r pryfed cyn bod y lleuad yn llawn. Dalier sylw: Gwellhaodd y cyngor hwn nifer fawr ar ol i’r doctoriaid gore i fethu.*”

MARI : Ma’ sŵn hyfryd yn y cyngor ’na, Dafi, ond wyddoch be sy’n mecso i, Shwd ma câl ’da John i gymryd y moddion—mae e’ mor biniwnog y dyddie’ ’ma. Trueni gneud moddion mor dda os na wna ei gymryd.

DAFYDD : Odi’r doctoriaid ’ma yn hidio rhwbeth a wnaiff y claf gymryd ’u moddion nhw, Mari, neu odi nhw yn gweyd wrth y claf beth sy yn ’u moddion nhw ? Ma’ nhw’n câl rhyw hen ddrugs a rhwbeth i roi lliw coch yn y botel, ei llond o aqua wedyn, ac yn ei ’mistyn i chi, a “ *half-a-crown, please,*” a “ *good-day.*” Gwedwch wrth John eich bod wedi câl galwn o gwrw Sir Gâr o Whitland, a’ch trwbwl wedyn fydd ei stopo i’w yfed. Wel, ’nawr,

dydd da, Mari, ma'n rhaid i fi i fynd ymlân â ngwaith.

MARI : Diolch yn fowr iawn, Dafi, diolch yn fowr. Wyddoch chi ma' gen i gynffon eidon yn yr heli, own i'n gadw i'r Ffeirad, mi hala fe lawr i Marged mewn amser i neud cawl erbyn dydd Sul. Dydd da, 'nawr, a chan diolch.

DAFYDD : Dydd da, Mari. (DAFYDD *yn brysur gyda* TWM *a* SIAMS.)

MARI (*yn croesi y gegin at* SIAN) : Ond fues i yn lwcus i ddod 'ma, a châl gafel ar Dafi, a'i gâl â'r fath hwyl arno. Shwd i chi yn cadw'r dynion 'ma mewn hwyl mor dda, Sian fach ?

SIAN : Mae'n cymryd blynydde i ddysgu shwd mae cadw teilwr mewn hwyl, Mari fach. Os am gadw teilwr ar ben y ford, neu unrhyw ddyn arall yn blês, rhaid gofalu am 'u bolie nhw, Mari fach, dyna'r *secret* i gyd. Pan weloch y teilwr yn dechre ysgwyd a grwmblan, a'i lygad ar y drws, cydiwch yn y ffrimpan a dachreuwch waeddi ar y forwyn am edrych ar oes wyau a y dowlad, a mi gewch y teilwr mor ddedwydd ag iar yn gori. (DAFYDD *yn ol at y bwrdd.*)

MARI : 'Rwy 'run farn a chi'n union, Sian. Rhaid fi fynd 'nawr, wyddys be sy mynd ymlân yn Pantyrhebog tra bo fi mâs. 'Prynawn da, Sian fach.

SIAN : 'Prynawn da, Mari, gobeithio gnaiff y moddion lês i John y gŵr.

((TWM Y PRENTIS *a* SARA'R *forwyn wedi anghofio popeth, ac yn caru yn gysurus wrth ochr y ford.*)

DAFYDD : Sian, pryd daw Daniel miwn ? Ma' ishe' i fesur e'arna i. Well i chi hala Sara i alw arno fe.

SIAN : Fydd Daniel ddim yn hir, achos mae bron bod yn amser swper. Weloch chi 'riod shwd grwt am i fola, chollodd e' funud eriod amser bwyd, er i fod e'n ddigon cysglyd pan fo gwaith yn galw. Dyma fe ar y gair. (DANIEL *yn dod i mewn.*) Daniel, dere 'ma, ma' Dafi am dy fesur di.

DANIEL : Mae wedi paso amser mesur arna i erbyn hyn, Dafi bach. 'Dw i ddim yn credu 'mod i wedi prifio dim oddiar y tro gês i ddillad newy' o'r blân.

DAFI : Rhaid bod yn drefnus, er hynny, Daniel ; 'does un teilwr gwerth ei alw yn gwneud britis heb fesur. Twm, O—ar ol y merched 'nawr, ie fe ? Ond oes gwyneb gan y plantach 'ma. At dy fusnes, machan i—mâs â'r llyfyr a'r pensil 'na. (DAFYDD *yn mesur* DANIEL, *ac yn mynd drwy y perfformans fel y gwna pob teilwr.*) Daniel, fachgen, ma'r britis ma dipyn mâs o ffashwn ; bryd ceisoch chi e'n newy', gwedwch ?

DANIEL : Ma' gen i dipyn o olwg ar yr hen fritch ma, Dafi. Ma gen i stori fach ynglyn ag e, a leicwn i chi i chlwed hi. Le ma' mam—odi hi mâs o glyw ?

DAFI : Odi, odi, Daniel, 'mlân â'r stori.

DANIEL : Pan own i yn grwt ifanc os tuag ugen mlyne' yn ol, mi fu hen ewyrth i fi o ardal Llanddewi farw, a mi gês siwt o ddillad newy' erbyn yr angla' ; y teilwr main gnath nhw.

DAFI : 'Dodd dim ishe enwi, 'rw' i yn rhy gyfarwydd â gwaith y teilwr main, ond ewch ym mlân.

DANIEL : 'Rown i yn fachan eitha *smart* 'r amser hynny, ac yn dipyn o ffowlyn gyda'r merched, ac ar gefen yr ebol melyn yr ês i'r angla', ond wyddoch chi, Dafi, yn lle mynd i'r angla mi hales y dwarnod gyda merch fach o ochor Llambed, a merch fach bert o'dd hi hefyd. 'Dyw mam ddim wedi 'specto dim hyd heddy'. (SIAN *yn dod i mewn.*) Ust! dim gair yn rhagor.

DAFYDD (*yn mesur y benlin*) : Bachan, beth yw'r hen swmp 'ma sy fan hyn ?

DANIEL : A gweyd y gwir wrthoch chi, Dafi, ma' awydd tynny *patent* mâs arna i am hwnna. Ma' rhaid fod yng ngwâd i yn dachre oeri y blynydde diwetha 'ma, a phan fo Anna'r winyddes yn gneud cryse gwlanen newy' i fi, 'rwy' bob amser yn gweyd wrthi, "Anna, rhowch ddigon o hyd yn y cryse." Dyna gyffyrddus ma' nhw i roi rownd i'r trâd yn y gwely yn y gaea.

Y GWEITHIWR : Ma' ishe gwraig ifanc yn Esgerwen, Daniel.

DANIEL : Nag o's, wir ; nag o's wir! Phrioda i byth tra fo mam gyda fi.

SIAN : Gwraig wir! Beth ma' hen grwt fel 'na'n mofyn â gwraig. Fe leicwn i i weld e' ar ol y merched. Ddaw dim gwraig ifanc i Esgerwen tra bw i byw—gwraig, wir!

DAFYDD (*yn ddamweiniol yn sangu ar droed* DANIEL. DANIEL *yn rhoi gwaedd, ac yn cydio yn ei droed.*) Daniel, Daniel! be' sy'n bod, fachgen ?

DANIEL : O, Dafi, mi gneithoch hi'n awr—ar ben yr hen fys mowr. 'Rwy'n câl poen beunyddiol yndo fe.

DAFYDD : Ma' rhwbeth mâs o le ar y bys 'na, Daniel. Odi e'n twco, ac yn brathu ?

DANIEL : Twco, wedoch chi ? Odi, mae e'n twco ac yn brathu ddydd a nos ambell waith, ac yn boenus ofnadw.

DAFYDD : Ma'r gymalwst arno chi, Daniel.

DANIEL : Y gymalwst, Dafi, nadi gobeithio.

DAFYDD : Odi, Daniel (*yn tynnu y llyfr allan*) —ond 'does dolur heb wellhâd, Daniel, a rhaid treio gwella hwn. Dyma fe (*yn darllen*) :—

"*Rhag y gymalwst.—Cais gig cath dew, saim gwydd, saim mochyn bychan, saim llwynog. Cais Fedwen chwerw, a Rue, ac wyau a malwod. Dod y rhai hyn i gyd mewn llestr pridd, a thwll yn 'i waelod e', dod glawr arno, i atal anwedd*

*allan a gwynt i ddod fewn. Dod waelod y llestr hwn mewn llestr cyfan arall, a thor dwll yn y ddaear, fel y gallot ddodi'r llestr isaf ynddo a'r llall ar ei wddf, a chyn dân o bob tu i'r uchaf, fel y gall y sudd a'r braster ddisgyn i'r isaf, ac â'r enaint hwn ira'r man afiach. Dalier sylw : Os na elli gael mochyn bychan tew, mi wnaiff ci bach yr un tro."*

DANIEL : Os na wellith hwnna fi, Dafi, mae ar ben arna i.

DAFYDD : Ma'r cyngor yna wedi gwella cannoedd, Daniel.

SIAN : Sara, odi'r cawl llâth 'na bron bod yn barod ? Mae'n amser swper, a mi fydd y bobol yn dod i'r ysgol gân cyn y dibennwn ni, os na 'nei di " hast." (TWM *yn taflu'r gwaith i lawr pan glyw sôn am swper.*)

DAFYDD : Twm, cer ymlân â dy waith ; 'rwyt yn llawer mwy parod i uso llwy bren na nodwy.

TWM : Mishtir, ma' rhwbeth ar 'y meddwl i. Fe leicwn gâl ych barn chi ar y mater.

DAFYDD : Ma'n dda gen i glwed fod meddwl gyda ti, Twm. Ychydig argol weles i am dano hyd yn hyn.

TWM : 'R y'ch chi yn dipyn o scoler, mishtir, a 'rwy' wedi clwed lot am gydraddoldeb. Beth yw ystyr y gair mowr 'na, mishtir ?

DAFYDD: Falle mai dipyn yn ifanc wyt ti, Twm, i ddeall y gair, ond gan dy fod wedi gofyn dyma fe i ti. Fe greodd Duw y dyn cynta' ar Ei lun a'i ddelw Ef Ei hun, medd y Beibl, felly yr ydym i gyd yn gydradd o'i flaen Ef. Dynion sydd wedi creu graddau, ac wedi ordeinio fod rhaid rhoi gwarogaeth i waed a chyfoeth, ac i ddangos y gwarogaeth yma drwy ymgrymu a thynnu'r het i'r Scweier a'r Ffeirad.

TWM: Os ydw i yn deall yn iawn, mishtir, yr ydych chi'n gystal a'r Scweier.

DAFYDD: Dyna fe i'r blewyn, fachgen.

TWM: Yr ych chi'n gredwr cryf yn y cydradd-oldeb 'ma, mishtir.

DAFYDD: Odw, o galon.

TWM: 'Nawr ma'r niwl wedi clirio. Wêl, Dafi'r Teilwr, dim rhagor o gawl llâth a bara barlys i Siams a finne, ond pawb i ishte gyda'i gily' ar y ford rownd i gâl tê a bara can a wyau i swper. (*Yn mwmian canu ar y dôn "Gwnewch bopeth yn Gymraeg."*)

Peth neis yw cydraddoldeb
  Fe'm cododd i i'r lan,
I iste gyda mishtir,
  'Gael tê a bara can.

DAFYDD (*yn cydio yn y slibwrt*): Y creadur anwar; naddo fi, weles i 'riod grwt mor herllyg.

Beth fydd dy ddiwedd di y slimyn tafodog ? Ond tra bod slibwrt gyda fi mi dy gadwa i di yn dy le, machan i (*yn bygwth* TWM).

SIAN : Gadwch iddo fe, Dafi bach, allwch chi ddim dishgwl gwell. Cofiwch o ble mae wedi codi. Dowch i gyd i gâl swper. (SIAN *a* DAFI *wrth y ford rownd, llian gwyn, tê, bara gwyn a wyau.* TWM, DANIEL, SIAMS *a* SARA'R *forwyn ar y ford fawr, crochan o gawl llâth, bara barlys, phiolau, a llwyau pren.*) *Cnoc wrth y drws.* Sara, ma' rhywun wrth y drws, edrych pwy sy 'na. (IFAN Y GWAHODDWR *yn dod i mewn.*)

IFAN : Dydd da a chant henffych i chi oll, deulu caredig, fel yr ydych chi'n codi ac yn cysgu, yn gwisgo ac yn bwyta yn y tŷ hwn.

Nesewch i rondo gyda brys,
'Rwy'n dod â gwarant fawr a gwys,
Fel llatai'n dod i lawr o'r llys,
At bawb mewn croen os nad mewn crys.

'Rwy'n dod atoch chi oll, o'r lleia hyd y mwya, yn gennad ac yn wahoddwr dros William Cwmrhaffe, o'r un tu, a Mari Llwyncelyn, o'r tu arall, i ofyn y ffafar o'ch cwmni a'ch 'wyllys da ar ddydd y briodas, sy'n cymeryd lle dydd Mercher, wthnos i 'fory. Bydd cwmni'r mab ifanc ar geffyle yn codi o Gwmrhaffe am naw o'r gloch y bore, ac yn mynd i 'mofyn y ferch ifanc o Lwyncelyn, lle bydd 'i chwmni hithe

yn disgwl am denyn. Mi â'n oddiyno i Eglwys Llansilio i gâl clymu'r ddau ddyn ifanc ynghyd mewn glân briodas, ac yna bydd cwmni'r briodas yn mynd i Lwyncelyn i gynnal neithor. Ma'r mab a'r ferch ifanc yn galw pob pwythyn dyledus iddyn' nhw y pryd hwnnw, a'r tad a'r fam o bob ochr yr un fath. A phob rhoddion a welwch fod yn dda i stofi ar y gŵr a'r wraig ifanc y dwarnod hwnnw, cânt 'i talu'n ol yn llawen pan fo galw, a'u derbyn yn ddiolchgar. Bydd cyfeillion y pâr ifanc yn cwiro'r tŷ y nos o'r blân yn Llwyncelyn, a derbynir pob rhoddion yn ddiolchgar.

Dewch i'r briodas, na fyddwch yn ddiflas,
I gael cwrw melyn, bara cyrch a menyn,
Bara can a chacen, a chawl cig maharen,
Cewch osod eich cwpan ar gornel y pentan
Tra byddwch yn smoco pib lawn o dybaco.
Cewch gwart pan y mynnwch o gwrw pan alwoch.
Mi fyddaf fi yno'n ofalus i'ch tendo,
Mae llawer o fechgyn yn dyfod i'r topyn,
Caiff pob merch lygadlon ddou neu dri o gariadon,
Ond, da chi, dewch weithian â blawd cyrch i Ifan,
Os hebddo 'rwy'n cymryd llond cawg o flawd annyd,
Neu flawd barlys hilaidd cyn ffaelu'n y diwedd,
G'newch gystal a galloch, a bendith Duw arnoch.

SIAN : Wel, Ifan, 'rwyt mor ffraeth dy dafod

ag erio'd. Iste lawr wrth y ford i gâl boled o gawl llâth. Mi ofala dy fod yn câl rhwbeth yn dy gwdin cyn mynd o 'ma. 'Nawr, i gyd, ewch ymlân â'ch swper. Ma'r bobol yn dachre dod i'r ysgol gân.

LLEN.

## CYFARWYDDIADAU ACT III.

---

NODIAD.—*I wneud yr act hon yn ddiddorol, rhaid i'r hwn gymer ran* DAFI'R TEILWR *fod yn feistr ar ganu. Dibynna y cwbl arno fe, a dylai y côr hefyd fod yn gantorion da ac wedi ymarfer digon yn flaenorol. Awgryma yr awdur ddysgu un o'r hen anthemau, megis gwaith Dafydd Siencyn Morgan, neu un o'r hen ranganeuon sydd â digon o'r pethau wna y cantorion alw yn "fugues" a "canons" ynddynt. Dysgwyd yn y Barri, pan actiwyd y ddrama, yr hen rangan "Bob yn ail," cyhoeddedig gan Mri. Hughes a'i Fab, Gwrecsam, ac o waith Isalaw. Bu yn llwyddiant perffaith o dan arweiniad "Yr Hen Deiliwr," ym mherson Mr. D. J. Martin. Awgrymir hefyd i'r arweinydd i wneud "local hits," drwy ddynwarediad diniwed o ryw hen arweinydd canu poblogaidd. Ys dywed pobl Cwm Rhondda, rhoer digon o foshwns, ond gofaler am ddignity y caritor.*

## ACT III.

### *Yr Ysgol Gân.*

[GOLYGFA—*Cegin Esgerwen eto. Pawb yn eistedd ar gadeiriau yn wynebu* DAFYDD. *Yr actwyr i gyd yn bresennol, ynghyd â rhagor o fechgyn a merched yn gwneud i fyny y côr. Y bechgyn a'r merched mewn gwisg Gymreig, darawiadol o'r oes.* SIAN *yn gwau hosan wrth y tân.*]

**DAFYDD:** 'Nawr te, fechgyn a merched, gadewch i ni ddachre. Odi pob un yn 'i le? (*Yn tynnu seinfforch allan ac yn canu i fyny ac i lawr i'r scale hyd nes cael y pitch priodol, yn rhoi y nod i bob llais, a'r chord yn cael ei ganu ddwywaith neu dair.*)

[NODIAD.—*Cofier nad oedd gan y cantorion lyfrau, dysgent drwy ganu ar ol yr arweinydd, felly mae gan yr arweinydd, wrth "bracteisio," lawer siawns i ddangos ei wit. Eir ymlaen â'r ysgol gân.*]

**DAFYDD:** Beth yw'r hen lais crâs 'na 'rwy'n glwed yn y bâs. (*Yn mynd i rownd tra maent yn canu.*) Ti, Siaci'r Felin. 'Rwyt wedi grondo

cymint ar yr hen gerrig 'na yn malu fel y mae dy lais mor galed a charreg. Cana fel hyn, fachgen. (*Yn dangos sut mae canu bâs.*)

[NODIAD.—*Wedi rhyw ddeng munud o " bractis."*]

DAFYDD : Well i chi gâl munud o " spell," tra bydd Mari Elen yn treio'i chân. Dere, Mari Elen os wyt ti am gâl encor ym " Mhenny Reading " Ysgol y Bont, rhaid i ti gymryd ati o ddifri. (MARI ELEN *yn dechreu canu, wedi cael siars ac esiampl gan y* TEILIWR, *" Wyt ti'n cofio'r lloer yn codi," neu rhyw hen solo adnabyddus.* Y TEILIWR *yn ei stopio unwaith neu ddwy, ac yna yn gofyn*) Beth sydd ar dy lais di heno, Mari Elen ? 'Rwyti'n arfer canu fel yr eos, ond heno 'rwyt yn hala i i feddwl am frân yn crawcian.

MARI ELEN : 'Rwy' wedi câl annwyd trwm, Dafi, ac ma'n llais i'n gryglyd.

DAFYDD : Wedi câl annwyd, aie, a chrygni yn dy wddwg. Aros funud, lodes, fe setla i hwnna ar unwaith. (*Yn tynnu y llyfr allan ac yn troi y dail.*) Gwrandawa 'nawr yn astud, a chithe, gantorion i gyd, gwrandewch.

" *Rhag crygni yn y gwddwg.—Daliwch lygoden a gwaedwch hi, cymerwch haen o edau sidan a throchwch hi yn y gwaed, yna llyncwch yr edau*

*gan ei dynnu yn ol a blaen drwy y gwddwg, a'r crygni a ddarfydda.''*

Dyna gyngor da i ti ; cofia ei gario allan ar ol mynd adre, neu alli di ddim canu yn y '' Penny Reading.'' 'Nawr te, gantorion, gan fod Mari Elen mâs o hwyl, gadewch i ni gâl un tro dros yr anthem (y rhangan), a 'dewch i ni gâl perffeithrwydd y tro hwn. (*Y tro hwn eir drwy y gân yn berffaith, a* DAFYDD *ar ei oreu fel arweinydd, a chyn y diwedd y mae yn colli ar ei hunan gymaint fel yr â i ben y gadair, ac ar ben y gadair y gorffenna arwain.*)

SIAN : Dyna, Dafi, well i chi gadel hi fan 'na yn 'i gogoniant. Mae'n mynd yn hwyr, a fe fydd rhaid i'r bechgyn a'r merched 'ma godi'n fore fory, 'to.

DANIEL : Stopwch, stopwch, mam, 'dyw'r cwmni ddim yn mynd i 'madel 'nawr. Nid yn amal y cawn ni gwrdd hwylus fel hyn. Beth am ddiferyn o dablen, mam ?

SIAN : O'r gore, Daniel, am unwaith mi gei dy ffordd. Mi leicwn innau glwed rhai o'r hen ganeuon unwaith yn rhagor. Dewch i gyd, gnewch eich hunain yn gyffyrddus. Sara, cer i mofyn shwced o dablen a chwpane. Daniel, g'na bawb yn gysurus.

DANIEL : Dewch, fechgyn, isteddwch lawr. (SARA *yn cario ystên bridd a chwpanau* ; DANIEL *yn arllwys a phawb yn siarad ac yn yfed iechyd da.*)

'Nawr te, fechgyn, fi yw cadeirydd y cwrdd 'ma, a rhaid i ni gâl cân neu ddwy. Mi alwa 'nawr ar Dafi Pantmoch, i ganu " Cân y Bachgen Ifanc."

CAN Y BACHGEN IFANC.

{ :l$_1$ |l$_1$ :t$_1$ |d :-.t$_1$|l$_1$ :m$_1$ |— :t$_1$ |d :r |m :t$_1$ }
{ My - fi yw'r bach-gen i - fanc, My - fi yw'r bach-gen }
Ond nawr 'rwy'n gorfod 'madel, Ond nawr 'rwy'n gorfod

{ |m :m |— :r |d :l$_1$ |r.d :t$_1$ |l$_1$ :— ||
if - anc sy - 'n car - io ca - lon drom.
ma - del, A thros y naw - fed don.

2. 'Rwy'n gadel bro fy mebyd, Ni ddeuaf byth yn ol,
   Tra dŵr yn afon Teifi, Tra porfa las ar ddôl.

3. Bydd lleuad yn disgleirio, Fel hwyad las ar lyn,
   Cyn torrai f'addewidion, A dwad 'nol ffordd hyn.

4. Fy ngharìad fach a'm twyllodd, Ar ol bod mor gytûn,
   'Roedd dichell yn ei chalon Tra cusan ar ei min.

5. Nis gallaf mwy wynebu Fy hen gyfeillion mad,
   Ffarwel i lannau Teifi, Ffarwel i fam a thad.

6. Pan fyddo'r storm yn rhuo, A'r môr yn berwi'n ffrom,
   O cofiwch am y bachgen sy'n cario calon drom.

[NODIAD.—*Os yn rhy hir gellir gadael allan yr ail a'r trydydd pennill.*]

DANIEL : Da ofnadw' Dafi, tase mam ddim yn

clwed, mi allwn weyd stori i ddangos mor agos i 'nghalon i ma' syniade 'rhen gân 'na. Beth ta ni'n câl rhwbeth mwy ysgon 'nawr a chytgan iddi fel gall y merched joino. Siaci'r Felin, ma' 'da chi gân hyfryd. Dewch â hi, Siaci. "Cân Gwen Fach," gan Siaci'r Felin.

## CAN GWEN FACH.

|d :-.t, |l, :d |r :-.d |t, :s, |m,'f,'s, :m,'f,'s,
Aeth Gwen fach i fynd i olch-i Migil di wagal diw

|l, :-.t, |d :- |d :-.t, |l, :d |r :-.d |t, :s,
no diw-no Eis - ie dill-ad glân oedd ar-ni,

|m,'f,'s, :m,'f,'s, |m,'f,'s, :m,'f,'s, |m,'f,'s, :m,'f,.s,
Canister no-pl a niw-an o pen-i-cor, Reis a corasin diw-

|l, :-.t, :d :- ||
no, diw-no. ||

2. Tra bu Gwen yn 'mofyn sebon, Migil, etc.,
Aeth y dillad gyda'r afon, Canister, etc.

3. Aeth Gwen fach i fynd i gorddi, Migil, etc.,
Eisie menyn ffres oedd arni, Canister, etc.

4. Tra bu Gwen yn 'mofyn halen, Migil, etc.,
Aeth yr hwch i'r stond â'r hufen, Canister, etc.

5. Aeth Gwen fach i fynd i facsi, Migil, etc.
Eisie cwrw ffres oedd arni, Canister, etc.

6. Tra bu Gwen yn 'mofyn berem, Migil, etc.,
Trodd y cwrw coch yn dablen, Canister, etc.

DANIEL : Mwy o hwyl o hyd—pert ofnadw' Ma' hen ganeuon 'na yn codi 'nghalon i, ond 'nawr rhaid cael cân gan yr hen champion. 'Rwy' am ofyn i Dafi'r Teilwr a fydd e' mor dda a chanu cân Tarw'r Esger. Dewch, Dafi.

DAFYDD : Na, na, Daniel, 'does 'ma neb am 'y nghlwed i yn canu. Mae 'ma llawer gwell cantorion na fi.

DANIEL : Fydd y cwrdd ddim yn gyfiawn heb i chi ganu, Dafi. Ma pawb am eich clwed chi. *(Y côr i gyd yn curo dwylo ac yn galw ar y teiliwr i ganu.)*

## CAN TARW'R ESGER.

{:$s_1$ |d :d |d :-.d |d :m |- :m |r :r |r :d |m :s |- :- }
Cydneswch hen gyfeillion, Cewch gennyf hanes union

{:m |f :l |s :m.f |s :m |d :r |m :f |m :r.m |r :d |- :- ||
Am darw du o fewn y wlad A phâr o'i draed yn rhyddion||

2. Daeth dau o fechgyn cryfion
I'r lan o Aberaeron,
Rhwng gwŷr a gwragedd a'r holl blant
'Roedd yno gant o ddynion.

3. Dim ond i'r tarw symud,
Ceid gweled oll mewn munud,
'Roedd yno rai yn gwaeddi mam,
A rhedeg am eu bywyd.

4. 'Roedd yno gynta ddeugen
O ddynion yn eu helfen,
Yn taflu'r cerrig mawr yn chwyrn
Tuag at ei gyrn a'i dalcen.

5. John Rowland, Aberaeron,
Oedd fwya dewr ei galon.
Fe a'th ymlaen yn fachgen chwyrn,
I gydio 'nghyrn yr eidon.

6. Fe drows y tarw ato,
A thrawodd ef nes twmblo,
A sgathrodd ef o'i ben i'w draed,
Nes oedd ei waed yn llifo.

7. 'Roedd Deio Llwyd yr Hwper
Yn cwato yn y gwter,
A Deio'r Sâr ar fron Pantllin,
Yn chwilio am ffin Cefnwalter.

8. Ond Shoni'r Gô, a bollten,
A'i trawodd yn ei dalcen,
A sefyll wnaeth y tarw mawr
Gan syrthio i lawr yn gelen.

9. Daeth Roli Mawr, y bwtcher,
A'i gert i hôl yr hanner,
A'r hanner arall aeth yn smart,
I'r lan yng nghart yr Esger.

10. 'Roedd Deio Lôn Pantsgawen,
Yn tynnu ar y dreipen,
A thynnai'r gwêr i bant i ffwrdd,
Cyflymach na thair meinwen.

11. Os sarrug oedd y tarw,
Mae 'nawr yn rhôst a berw,
Yn cynnal llawer teulu glân,
Mi goda i 'nghân i gadw.

SIAN : Caton pawb, 'drychwch mor hwyr ma' hi. Fydd Daniel ddim 'nagos mor fywiog bore fory. Y mae'n hen amser i bawb fod yn 'i gwelyau.

DAFI : Odi, Sian, 'ry'ni wedi cael noswaith lawen, ac amser hapus, ac y mae pawb yn ddiolchgar i chi am eich serchogrwydd a'ch caredigrwydd. Mi godwn i gyd 'nawr, ac mi ganwn yr hen alaw anfarwol, "Ar hyd y nos." (*Y cwmni i gyd yn canu.*)

AR HYD Y NOS.

1. Caru'i iaith yw gwaith y Cymro,
Ar hyd y nos ;
Caru'i wlad gu fad tra byddo,
Ar hyd y nos ;
Caru urddas ei berth'nasau,
Caru moesau a defodau
Ei odidog ddewrion dadau,
Ar hyd y nos.

2. Ni awn adre, bawb, dan ganu,
Ar hyd y nos ;
Saif ein hiaith tra safo Cymro,
Ar hyd y nos ;
Bydded undeb a brawdgarwch
I ni'n gwlwm diogelwch,
Felly carwn, er hyfrydwch,
Ar hyd y nos.

LLEN.

